Information Commissioner's Office
Swyddfa'r Comisiynydd Gwybodaeth

# Adroddiad Blynyddol ar y Gymraeg
# Ebrill 2021 i Fawrth 2022



## Rhagymadrodd

Swyddfa'r Comisiynydd Gwybodaeth (ICO) yw swyddfa rheoleiddiwr y ddeddfwriaeth ar hawliau gwybodaeth yn y Deyrnas Unedig. Mae hi o dan nifer o rwymedigaethau cyfreithiol o ran y Gymraeg. Nodir y rhain yn llawn yn hysbysiad cydymffurfio Safonau’r Gymraeg.

Un o’r gofynion hyn yw cyhoeddi adroddiad blynyddol sy'n manylu ar y camau a gymerwyd o ran cydymffurfio â’r safonau uchod. Mae'r adroddiad hwn yn ymdrin â’r cyfnod o Ebrill 2021 hyd at Fawrth 2022.

Yn ystod cyfnod yr adroddiad hwn, gwelodd yr ICO alw uwch am ei gwasanaethau a'i hadnoddau a chododd heriau ychwanegol inni oherwydd pandemig Covid-19. Mae rhagor o wybodaeth am natur y gwaith a wnaethom i'w weld yn ein hadroddiad blynyddol ein hunain.

## Y cefndir

Mae’r ICO yn rheoleiddiwr i’r Deyrnas Unedig gyfan, gan ymdrin â Chymru, Lloegr, yr Alban a Gogledd Iwerddon. Prif swyddogaeth swyddfa ranbarthol yr ICO yng Nghymru yw sicrhau bod materion sy’n benodol i Gymru yn cael eu hadlewyrchu’n briodol yng ngwaith y sefydliad ehangach. Mae swyddfa Cymru hefyd yn gyfrifol am ddarparu gwasanaethau Cymraeg i randdeiliaid Cymraeg eu hiaith yng Nghymru.

## Hysbysiad cydymffurfio

Mae Mesur y Gymraeg (Cymru) 2011 yn gwneud y Gymraeg yn iaith swyddogol yng Nghymru. Mae hyn yn golygu na chaniateir ei thrin yn llai ffafriol na'r Saesneg. Mae’r ICO yn dod o dan y safonau hyn ac mae copi o'n hysbysiad cydymffurfio i'w weld ar ein gwefan yn www.ico.org.uk a hynny yn Gymraeg a Saesneg.

# Y camau a gymerwyd dros y flwyddyn

Drwy gydol y flwyddyn, rydym wedi parhau i ddarparu gwasanaethau yn Gymraeg i randdeiliaid Cymraeg eu hiaith. Er gwaethaf y galw am wasanaethau a grybwyllwyd uchod, rydym yn falch o nodi ein bod wedi parhau i roi gwasanaeth dwyieithog di-dor i unigolion yng Nghymru ac wedi cael adborth cadarnhaol o ran ein darpariaeth Gymraeg. Mae hyn yn adlewyrchu ymrwymiad parhaus yr ICO i ymwneud â'r rhanddeiliaid yn Gymraeg.

Gwelir isod rai o'r camau allweddol a gymerwyd rhwng mis Ebrill 2021 a Mawrth 2022:

- Rydym wedi integreiddio rhyngwyneb defnyddiwr dwyieithog ar ein gwefan yn llawn, sy'n caniatáu i'r ymwelwyr ddewis y Gymraeg fel yr iaith a ffefrir ar ein bar offer hygyrchedd a llywio'n gwefan yn Gymraeg. Pan fo cynnwys Cymraeg ar gael, bydd yn cael ei arddangos yn awtomatig. Hyd yn hyn mae 178 o dudalennau ar gael yn Gymraeg, sef cynnydd o 66 o dudalennau ers y flwyddyn cynt.

- Er mai'n Prif Swyddfa yn Wilmslow yw lleoliad ein tîm ffioedd, cafodd system ei datblygu i ganiatáu i randdeiliaid Cymraeg eu hiaith dalu eu Ffi Diogelu Data yn Gymraeg. Mae hyn wedi gwneud y broses o dalu ffioedd cofrestru yn gwbl ddwyieithog.

- Rydym yn parhau i ddatblygu'n system ffonau dwyieithog i ganiatáu i'r galwyr ddethol eu dewis iaith ar ddechrau'r alwad, gan ganiatáu iddynt gael cyngor ac arweiniad yn Gymraeg.

- Rydym yn parhau i ddatblygu'n system ffôn awtomataidd ddwyieithog fel bod y galwyr hefyd yn gallu gadael negeseuon llais yn eu dewis iaith gan warantu galwad yn ôl yn Gymraeg.

- Er inni weithio gartref yn bennaf oherwydd y pandemig, fe barhaodd ein menter "Dydd Gwener Cymraeg" drwy gyfrwng Teams, ac anogwyd pobl i ddefnyddio'r Gymraeg yn ein cyfarfodydd mewnol. Mae cynnydd yn y defnydd o'r Gymraeg mewn sgyrsiau bob dydd ymhlith siaradwyr Cymraeg wedi bod yn amlwg o gofio bod 80% o'r staff yn siarad Cymraeg neu'n dysgu. Rydym hefyd yn defnyddio'r Gymraeg yn y gweithle yn ddyddiol.

# Ymholiadau

Yn ystod y flwyddyn, cafodd yr ICO 189 o ymholiadau yn Gymraeg, sef bron 10% o'r holl ymholiadau a drafodwyd gan swyddfa'r ICO yng Nghymru. Mae'r ymholiadau hyn yn ymrannu'n 21 drwy'r ebost a 168 o ymholiadau ffôn.

## Gwaith achosion

Cafodd 8 achos eu cynnal yn Gymraeg ac fe ymdriniwyd â phob un yn unol â'n safonau gwasanaeth.

## Cwynion

Cawsom ddwy gŵyn ynglŷn â'n darpariaeth gwasanaethau Cymraeg, ac ymdriniwyd â’r rhain yn unol â'n gweithdrefn gwyno Gymraeg.

## Codi ymwybyddiaeth

Drwy gydol y flwyddyn, parhaodd swyddfa Cymru i godi ymwybyddiaeth o’r Gymraeg gyda chydweithwyr ar draws y sefydliad mewn cyfarfodydd, gan gynnwys cyfarfodydd ymsefydlu corfforaethol. Cynhaliodd staff swyddfa Cymru sesiynau codi ymwybyddiaeth gyda thimau mewnol yn ein prif swyddfa, i helpu i wella’r ddealltwriaeth o'n gwasanaethau ac i atgoffa’r staff am rwymedigaethau’r ICO o dan Fesur y Gymraeg 2011. Yn ystod y flwyddyn, mae swyddfa Cymru wedi cael cryn dipyn o gysylltiadau rhagweithiol gan adrannau eraill o'r ICO mewn perthynas â'r Gymraeg, sydd wedi bod yn braf i’w nodi.

## Cyfryngau Cymdeithasol / Gwefan

Mae pob neges, postiad a chais a anfonir i'n platfformau yn y cyfryngau cymdeithasol drwy gyfrwng y Gymraeg yn cael ymateb Cymraeg yn ddi-oed. Dros gyfnod yr adroddiad cafodd pob postiad oedd yn berthnasol i Gymru’n unig eu cyhoeddi’n ddwyieithog.

Mae’r holl ganllawiau ar ein gwefan allanol sy'n berthnasol i Gymru ar gael yn ddwyieithog ac yn cael eu cyhoeddi yr un pryd â'r fersiwn Saesneg.

## Hyfforddiant

Mae’r ICO yn dal i annog ac i baratoi’r staff i allu ymdrin â rhanddeiliaid yn Gymraeg drwy gydol eu taith drwy’r gwasanaeth. Bob blwyddyn, mae pob aelod o’r staff yng Nghymru yn cael cyfle i ddatblygu eu sgiliau Cymraeg os ydyn nhw’n dymuno gwneud hynny, a hynny gyda chymorth gan yr ICO. Yn ystod cyfnod yr adroddiad, mae dau aelod o’r staff wedi parhau i ddatblygu eu sgiliau Cymraeg drwy fodiwlau dysgu ar-lein wedi'u hariannu.

## Asesiad o sgiliau’r staff

O'r pum aelod staff yn swyddfa Cymru, mae gan dri sgiliau Cymraeg llafar rhagorol. Anogir pob un ohonynt i ymateb i ymholiadau ysgrifenedig neu

ymholiadau ebost yn Gymraeg lle maent yn teimlo'n ddigon hyderus i wneud hynny heb alw ar gyfieithydd proffesiynol. Y nod yn hyn o beth yw datblygu sgiliau ysgrifenedig mewnol.

## Recriwtio

Ni chafwyd unrhyw ymarferion recriwtio yn ymwneud â swyddi yng Nghymru yn ystod cyfnod yr adroddiad hwn.

## Costau cyfieithu

Yn ystod cyfnod yr adroddiad hwn, cafodd £9,192.74 ei wario ar gyfieithu dogfennau a thudalennau gwe i'r Gymraeg. Dyna gynnydd o £1,385.74 (15%) ar wariant y flwyddyn cynt.

Cafodd cyfanswm o 108 o ddogfennau eu cyfieithu, rhai yn fewnol, gan gynnwys dogfennau gwaith achosion, hysbysiadau i'r wasg, llythyrau at siaradwyr Cymraeg a thestun ar gyfer tudalennau gwe sy'n dod o fewn cwmpas ein prosiect gwefan Gymraeg.

## Camau sydd ar y gweill

- Byddwn ni'n mabwysiadu'n Polisi Cymraeg mewnol yn ffurfiol i helpu i gadarnhau'n rhwymedigaethau Cymraeg ar draws yr ICO, ac i helpu i sicrhau bod pob aelod o'r staff yn ein prif swyddfa yn ymwybodol o'n hymrwymiad i ymgysylltu â'n rhanddeiliaid yn Gymraeg.
- Rydym yn anelu at wella ymhellach ar ymwybyddiaeth y staff o arferion cyflogaeth sydd ar gael trwy'r Gymraeg, er enghraifft PDRs a chyfarfodydd 1:1.
- Byddwn yn archwilio'r opsiynau ar gyfer defnyddio'r Gymraeg o fewn amgylchedd cyfarfodydd o bell.
- Byddwn yn dylunio ac yn datblygu tudalen glanio Cymraeg newydd ar ein gwefan a hwnnw'n tynnu ynghyd ganllawiau defnyddiol ynghylch hawliau gwybodaeth mewn un lle i ddefnyddwyr Cymraeg eu hiaith. Bydd y tudalen hwn yn hawdd i'w gyrraedd o dudalen hafan yr ICO.
- Rydym yn anelu at greu rhwydwaith dysgu Cymraeg sy'n agored i'r holl staff ar draws yr ICO sy'n byw yng Nghymru neu sy'n mynegi diddordeb mewn dysgu Cymraeg. Ein nod yn hyn o beth yw cyfarfod yn rheolaidd i sgwrsio yn Gymraeg a helpu i ategu datblygiad sgiliau llafaredd/llythrennedd Cymraeg ymysg staff ar draws y sefydliad.